ALLAN LINE—LIVERPOOL I CANADA.

# O ARFON I CANADA

LLYTHYRAU MR. T. SAMUEL INGHAM.

[O'r "Genedl Gymreig" am 1[illegible]]

CAERNARFON:
Argraphwyd gan W. Gwenlyn Evans, Pool Street.

LLYTHYRAU

MR. T. SAMUEL INGHAM.

# O ARFON I CANADA

YMDDANGOSODD YN "Y GENEDL GYMREIG," 1909

---

CAERNARFON:

ARGRAPHWYD GAN W. GWENLYN EVANS, POOL STREET.

1910.



ALLAN LINE R.M.S. "VIRGINIAN."

# LLYTHYRAU

## Mr. T. S. INGHAM, EBENEZER, CWM Y GLO, CAERNARFON, AR EI DAITH O ARFON I CANADA.

CYCHWYNODD O LERPWL GYDA LLONG YR ALLAN LINE S.S. "VIRGINIAN," MEHEFIN 25AIN, 1909, A DYCHWELODD GYDA'R S.S. "TUNISIAN," O MONTREAL, MEDI 10FED.

Credwn y bydd hanes y daith fawr hon o ddyddordeb neillduol i filoedd o ddarllenwyr y *Genedl*, yn arbenig felly i'r dosbarth gweithiol, canys amcanaf roddi hanes a manylion cywir am y wlad fawr tudraw i'r Werydd, a hyny heb orliwio dim—y gwir, a dim ond y gwir.

Am dri o'r gloch, prydnawn Iau, Mehefin 24, wele fintai o rhyw ddeunaw o feibion Eryri ar pen pier Bangor yn disgwyl yr agerlong *La Marguerite* am Lerpwl, ar eu rhan gyntaf o'u taith i Quebec, Canada. Ymddangosai pawb, beth bynag oedd ein teimladau, yn eu hwyliau goreu, gan ganu'n iach i'w cyfeillion caredig oedd wedi dod i'w hebrwng. 'Roedd rhai yn troi eu cefnau ar Gymru lon am y tro cyntaf yn eu hoes, ac y mae yn fwy na thebyg fod y galon dyner guddiedig yn drwm yn mynwes aml un ohonynt, ac yn cael profiad beth yw gadael perthynasau hoff, car a chyfaill ar ol yn Ngwalia Wen. Eto, "Mae gobaith gwr o ryfel, 'does obaith neb o'r bedd," medd rhyw hen ddywediad, ac er mai nid i "ryfel" yr oedd y fintai hon yn cychwyn, mae gobaith y caent oll ddod yn ol rhyw ddydd.

Wedi mordaith ddigon dymunol am rhyw bedair awr, dyma ni yn cyraedd y *landing stage*, Lerpwl, a phawb yn iach ac yn brysur gasglu ein baggage er myned i'r lan.

Yma 'roedd y Cymro caredig, Mr. Herbert Evans, o swyddfa yr Allan Line, yn ein derbyn, ac yn hynod groesawus ohonom oll, ac wedi gwneyd trefniadau rhagorol yn nglyn a'n tipyn taclau, a phobpeth angenrheidiol gogyfer a'r daith yforu—ddydd Gwener. Dymunwn ddyweyd yn y fan hon fod Mr. H. Evans wedi profi ei hun yn gyfaill pur i'w gydgenedl, ac fe wnaeth bobpeth yn ei allu er sicrhau cysur y fintai ar eu taith. Mae y fintai wedi erfyn arnom ddatgan, drwy golofnau y *Genedl*, eu diolchgarwch gwresocaf i Mr. Herbert Evans am ei fawr garedigrwydd tuagatynt, ac hefyd ddymuno iddo hir oes a phobpeth o'r hyn sydd dda.

Wel, dyma y diwrnod mawr wedi dod, ddydd Gwener, Mehefin 25,—sef dydd i hwylio o Lerpwl am Canada, ac am ddeuddeg o'r gloch dyma'r fintai wedi casglu at eu gilydd dan ofal Mr. William Griffith, 12, Friars Road, Bangor, cynrychiolydd Llywodraeth Canada, ag sydd yn aros yn Nghymru y dyddiau hyn, ac efe oedd wedi sicrhau gwaith i'n cyfeillion yn Quebec.

Erbyn un o'r gloch, maent oll ar fwrdd y Royal Mail Steamer *Virginian*, llong 12,000 o dunelli, perthynol i'r Allan Line, pa un sydd wrth angor ar ganol y Ferswy.

Am dri o'r gloch mae yn dod at y lanfa, er derbyn teithwyr yr ail ddosbarth a'r cyntaf, ac am bump o'r gloch i'r fynud mae Capten Vipond yn gorchymyn "*Let go the ropes,*" a dyna ni yn esmwyth symud lawr yr afon am y gorllewin pell.

Nid oedd ffarwelio a'n perthynasau a'n cyfeillion, a "chwifio'r cadach gwyn"

yn brofiad newydd i ni, ond yr oedd i'r rhan fwyaf o'r fintai Gymreig hon, ac, ysywaeth, i lawer un ag oedd ar fwrdd y *Virginian* y tro hwn. Mae pob "hen law" ag sydd wedi teithio dipyn ar hyd a lled y byd yn cael tipyn o hwyl ddiniwed yn mhlith y "*first timers*," ac fe gawsom ninau ein rhan y tro yma.

Doniol iawn oedd gwylio ambell i un yn syllu dros ochr yr hen long ar fynyddau Cymru a gwastadedd Ynys Mon gyda'r nos. Gofyn i ambell un o'r boys, "Beth sydd, frawd?" "Och, wn i ddim, fachgen, meddwl am danynt gartref yr oeddwn." Y gwir yw, ddarllenydd, dipyn o'r peth hwnw—hiraeth—oedd ar y rhan fwyaf y noswaith hon. 'Roedd pawb wedi gwneyd cyfiawnder a'r bwyd a'r danteithion yn ystod y ciniaw, te, a'r swper; a hwyl fawr pan yn hwylio am eu bunks am y noswaith gyntaf o gwsg ar ganol y cefnfor. Y "*top-bunkers*" yn ystyried eu hunain yn fwy diogel na'r rhai oedd odditanynt pe digwyddai clefyd y mor droi yn drech na hwynt. Ond yn ol a glywsom, ni fu neb o'r fintai yn sal yn ystod y noswaith hon, canys 'roedd Dafydd Jones yn bur dawel.

Sadwrn, Mehefin 26. Boreu hafaidd, a'r mor yn hynod dawel. Aml un o'r boys heddyw wedi gallu gwneyd heb ddim brecwast na chiniaw, ac yn rhyw feddwl fod rhywbeth o'i le ar yr hen long. I ambell un nid oedd hi lawn mor ddiysgog a'r hen Wyddfa. Amryw yn swp sal yn eu *bunks*, ac yn malio ond ychydig, os dim, pa un a gyrhaeddem ni Quebec ai peidio. Clefyd od yw clefyd y mor, ag ychydig iawn o gydymdeimlad y mae dyn yn ei gael, yn enwedig gan rai fel nyni sydd yn ddibrofiad ohono. Dod o hyd i Gymro o'r Deheudir, hefyd Gymraes o'r un rhanbarth, ac un o Gwmyglo. Fe fydd eu henwau genym cyn cyrhaedd Quebec.

Wrth fwyta ein boreufwyd heddyw yn cael allan mai *detective* oedd ein cyd-deithydd ar yr ochr dde i ni wrth y bwrdd, a'i garcharor y tudraw iddo, yn cael ei ddwyn yn ol i'r wlad hon am dwyllo. Yr ol hyn ddywedodd Davidson, y swyddog, wrthym, 'roedd "Mac" wedi bod yn *agent* tir yn y gorllewin, ac yn mis Mai diweddaf fe ddiangodd o Calgary gyda $5,000, gan fyw yn fras tua Montreal a New York. Gadawodd New York am Lerpwl, ond cyn iddo allu glanio yno 'roedd gwyr y got las wedi ei gymeryd i'r ddalfa tuallan i'r Bar Lightship, ac awd ag ef i Lundain, ac yno y bu hyd nes daeth Davidson drosodd i'w ddwyn yn ol i wynebu llys barn yn Alberta. Boneddwr dyddorol iawn oedd Detective Davidson, ac fe dreuliodd "Dyn y *Genedl*" lawer awr ddifyr yn ei gwmni, a chawsom lawer iawn o hanes gwlad y gorllewin ganddo. Ni wyddai neb o'n cyd-deithwyr mai carcharor oedd McKay. 'Roedd yn un o'r rhai mwyaf hwyliog a chwareus ar fwrdd y llong, ac at ei ryddid i fwynhau ei hun fel y myno. Eto, 'roedd llygad craff Davidson arno yn barhaus. 'Doedd ddim perygl i Mac fyned dros fwrdd y llong, canys yr oedd o natur rhy galonog i wneyd diwedd arno ei hun, felly 'roedd yr heddwas a'r carcharor yn ddigon diogel tra 'roeddym ar ganol y mor mawr llydan. Efallai y bydd genym fwy i ddweyd am y ddau ddyn hyn pan awn allan i Alberta.

Heddyw hefyd daethum i gyfarfyddiad a Mr. Malcolm Scott, y comedian enwog, a brawd i'r Llyngesydd Syr Percy Scott. Mae llawer tua Llandudno yn adnabod Malcolm, canys bu yno yn aros rai blynyddau yn ol; ac os cawsant gymaint o hwyl yn gwrandaw ar ei ffraethineb ag a gawsom ni, wel, mae yn dra thebyg na fydd iddynt byth ei anghofio. Cadwodd Malcolm Scott yr holl deithwyr o'r *saloon* i'r *steerage* mewn hwyl ar hyd y fordaith. Gall siarad yn Gymraeg, a bu yn canu i'r fintai Gymreig "Good-bye, Dolley Grey," yn Gymraeg. Mynd am drip o rhyw dair wythnos i Canada a'r Unol Dalaethau yr oedd Mr. Scott. Treuliasom lawer awr yn ei gwmni dyddorol; ac mae hanes ei fywyd a'i lwyddiant, fel ag y dywedodd wrthym, o'r dyddiau y bu yn enill ei fara beunyddiol drwy lanhau cyllill ac esgidiau mewn gwesty yn Montreal pan yn 14 oed, yn wers i bawb ag sydd ganddo dalent, heb eisieu dim ond ei dadblygu drwy ddyfalbarhad.

Sabboth, Mehefin 27.—Y tywydd yn parhau yn hafaidd, a'r mor yn dawel iawn; eto mae y rhan fwyaf o'r fintai dipyn o fod yn holl-iach, ond yn gwella at yr hwyr. Cawd gwasanaeth a phregeth yn y *saloon* gyntaf a'r ail, ac hefyd yn y *steerage*, yn ystod y dydd gan un o guradiaid yr Eglwys Wladol, oedd yn myned allan i sefydlu yn Canada.

Bu y Cymry heno yn canu hen emynau Cymreig am amser maith, a daeth y rhan fwyaf o'r teithwyr i wrandaw arnom.

Dydd Llun, Mehefin 28.—Erbyn ganol dydd heddyw yr ydym 1,194 o filldiroedd o Lerpwl. Y mae yn hynod dawel, ond nid ydym yn gweled dim, gan fod niwl mawr, a chorn yr hen long yn myned yn barhaus, a'r swyddogion yn gwilio yn fanwl rhag digwydd gwrthdarawiad â rhyw long arall. Gan fod yr oll o'n cyfeillion Cymreig wedi llwyr wella o effaith clefyd y mor erbyn y prydnawn cawsom math o *roll call*, a dyma eu henwau:—Griffith Hughes a Elias G. Hughes, Pisgah; Hugh Williams a Griffith Jones, Bryn Twrog, Cesarea; Thomas Jones, Dolawen, Cesarea; Owen R. Owen, Jericho, Moeltryfan; Robert Williams, Cloddfa Lon, Nantlle; John Owen Jones, Bryn Rhedyn Farm, Groeslon; W. Owen Owens, Wern Oleu; a John H. Jones, Dolwar Fechan, Rhostryfan; Thomas Baker, William H. Jones, Snowdon Street, a William S. Evans, High Street, Penygroes; William Hughes, Tregarth; Thomas a David Roland Jones, Garn, Bala; William Morgan, Newport, De Cymru; Hugh Jones, Ty Capen, Pentraeth, Môn; Richard Thomas, Dowlais, De Cymru; Miss Catherine Owen, Bryn Tirion, Cwmyglo; a Miss Evans, Llandderfel. Hefyd, yn mhlith swyddogion y llong y mae Mr. Griffith, Llanwnda; Mr. Lewis, o Ddolgellau; a Mr. Owen Jones, Lerpwl. Mr. Jones yw y prif arolygydd yn yr ail *saloon*.

Gan na ddigwyddodd dim o bwys ar hyd y fordaith o Lerpwl i Quebec ar ol hyn, ni fanylwn am y gweddill o'r daith ar y mor. Bydd ein llith nesaf o Quebec yn mlaen am y Gorllewin.

Bangor, Saskatchewan, Canada.
Gorphenaf 26, 1909.

---

Cyrhaeddasom Quebec, ar ol mordaith ardderchog, am 12 o'r gloch ddydd Gwener, Gorphenaf 2il, a phawb yn iach. Dylasem fod wedi dweyd fod y Marconi Wireless Telegraph o wasanaeth anmhrisiadwy i deithwyr tra ar y cefnfor y dyddiau hyn. Mae llongau yr Allan Line yn defnyddio y ddyfais odidog hon rhwng Lerpwl a Quebec; ac yn ystod y fordaith yr oeddym yn cael gwybod, bob dydd, bobpeth o bwys oedd yn digwydd yn mhob rhan o'r byd. Mae yr Allan Line yn cyhoeddi newyddiadur, sef yr *Allan Line Daily News*, bob boreu, a gwerthir hwnw am bum' sent. Mae teithio'r byd y dyddiau hyn yn fater tra gwahanol i'r hyn oedd ugain mlynedd yn ol.

Erbyn pedwar o'r gloch dyma ni wedi ffarwelio, am dymor o leiaf, â'n cyfeillion, y fintai Gymreig, a adawyd dan ofal boneddwr ag oedd yn myned gyda hwynt i fyny'r wlad i'r lle yr oeddynt yn myned i weithio, sef ar y Grand Trunk Railway construction tudraw i Lataque, yn nhalaeth Quebec. Er fod ganddynt daith fawr o'u blaenau, 'roeddynt oll yn galonog, ac er nad ydym wedi clywed dim oddiwrthynt, gobeithiwn eu bod oll yn hapus yn eu lle newydd. Rhaid i ddyn weithio yn y wlad hon, a hyny o dan amgylchiadau dipyn yn wahanol i'r hyn ydynt yn yr Hen Wlad, ond y mae yma gyflog da i'w gael, a bwyd rhagorol, a chymeryd pobpeth at eu gilydd, mae bywyd y gweithiwr yn fil gwell yn y wlad hon nag yng Nghymru y dyddiau hyn. Mae yn warth meddwl fod dynion yn gweithio yn galed yn chwareli Cymru heddyw am gyflogau fawr gwell na'r hyn mae y dyn du, y Kaffir, yn ei dderbyn yn Affrica, ac, o ganlyniad, yn gorfod byw megis ar oleuni dydd a gwynt. Nid ydych yn derbyn yr hyn sydd haner digon er cadw corph ac enaid wrth eu gilydd ac er gwaredu yr oes sy'n codi rhag dirywio.

Drwg genym ddyweyd, eto, mae yn ffaith anwadadwy, mae y mwyafrif ohonoch yn amddifad o ysbryd anibyniaeth ac uchelgais, ac, megis anifail mud, yn boddloni ar amgylchiadau a chyfundrefn sydd yn hollol groes i reswm a'r hyn sydd deg a chyfiawn.

Chwi, ddynion a merched ieuainc Arfon, Mon a Meirion, deffrowch! ysgydwch lwch trais a gormes ymaith, a mentrwch allan i ranau ereill o'r greadigaeth hon, lle mae tegwch a chyfiawnder yn teyrnasu. Mae y llythyr hwn yn



FFARM YN NGORLLEWIN CANADA.    CINIAW YN Y CAE ER ENILL AMSER.

cael ei ysgrifenu yn nghanol y sefydliad Cymreig yn Western Canada, a bydd genym lawer iawn i'w ddyweyd am yr hyn a enillodd ymfudiaeth i'n cydgenedl yn y rhan hon o'r byd, yn ein llythyrau nesaf.

Treuliasom ychydig oriau yn ninas Quebec, yr hon, fe ddywedir, yw y ddinas brydferthaf yn Ngogledd America. Mae ei phoblogaeth yn 75,000, a'r lle yn myned ar gynydd.

Am 7.30 yn yr hwyr mae yr hen *Virginian* yn hwylio allan am Montreal; a dyma un o olygfeydd ardderchocaf y byd, sef myned i fyny afon St. Lawrence o Quebec i Montreal, medd y sawl ag sydd wedi ei theithio yn ystod y dydd. Ond 'roedd hi yn nos arnom ni y tro hwn; ac fe gyrhaeddasom Montreal am saith o'r gloch foreu Sadwrn, Gorphenaf 3ydd. Dyma eto ddinas fawr ac ardderchog, ond y lle mwyaf Pabyddol a welsom yn ein hoes. Eglwysi y Pabyddion ar gongl pob heol o'r bron, a'r ddinas yn cael ei llywodraethu gan y French-Canadians, a mwy o'r Ffrancaeg nag o'r Saesneg yn cael ei siarad yn y dref. Pan yn cyrhaedd yma nid oeddym yn gwybod am gyfeiriad neb o'n cydgenedl oddigerth Mr. a Mrs. J. H. Roberts, 757, Atwater Avenue, sef gynt o'r Gwalia House, Porthmadog. Mawr oedd y derbyniad a'r croesaw gawsom gan y cyfeillion caredig hyn; a thrwyddynt hwy cawsom hyd i lawer o hen gyfeillion ereill. Yma hefyd y daethum i gyfarfyddiad â'r Parch. J. R. Evans, gweinidog parchus a hynod gymeradwy yr eglwys Fethodistaidd Gymreig Montreal. Daeth Mr. Evans i ofalu am yr eglwys hon tua chwe' mis yn ol o Pennsylvania, ac mae yr olwg hapus a blodeuog sydd ar yr eglwys yn profi fod bendith ar yr eglwys.

Mr. J. H. Roberts yw arweinydd y gan, a Mrs. John Owen (Felinheli gynt), sydd yn chwareu'r organ yn yr eglwys Gymreig. Hefyd mae Mr. Moses Roberts yn swyddog yn yr un eglwys. Mae Mr. M. Roberts yn nai i'm diweddar hen gyfaill ffyddlon, Mr. Griffith Owen Jones, "Caermoel," gynt Ebenezer, sef mab i'w chwaer Ellen. Mae yn y wlad hon er's pymtheg mlynedd. ac yn dal swydd bwysig yn Montreal. Mae yn bleser genym allu dyweyd fod Mr. J. H. Roberts a Mr. John Owen mewn swyddi da ac uwchraddol yn y ddinas hon. Ein profiad yn y wlad hon yw yr un ag yn ystod ein arhosiad maith yn Ne Affrig am y Cymro uchelgeisiol. Mae yn gallu ymwthio i'r rheng flaenaf, ac yn dal swyddi pwysig a chyfrifol.

Mae tref Montreal yn sefyll ar ynys o'r un enw, sydd rhyw 10 milldir o hyd ac o 7 i 10 o led. Mae poblogaeth y dref yn agos i 400,000, ac yma mae y felin flawd fwyaf yn yr Ymherodraeth Brydeinig. Wedi treulio wythnos yn y dref hon, aethum yn mlaen gyda'r Canadian Pacific Railway am Winnipeg, Manitoba; ac wedi taith o ddeuddydd a dwy noswaith, cyrhaeddasom prif ddinas Western Canada. Taith undôn iawn yw o Montreal i Fort William, dim ond gwlad goediog yn ddibaid. Dywedir yn aml fod coed y byd yn darfod; wel, fe fydd pawb sydd heddyw yn fyw wedi myned yn bur ddi-son-am-dano cyn y bydd coedydd mawrion Ontario wedi eu clirio.

Rhyw haner can' mildir i'r dwyrain o Winnipeg mae arwynebedd y wlad yn cyfnewid, a dyma y teithydd yn dod i olwg ffermydd sydd yn wir deilwng o'r enw. Tir gwastad fel bwrdd *billiards*, a'r cnydau gwenith mwyaf a welsom erioed. Nid rhyfedd mai Gwlad y Gwenith y gelwir Canada. Mae'n anhawdd rhoddi desgrifiad cywir am y ffermydd anferth a thoreithiog sydd yn y wlad gyfoethog hon, yn enwedig pan yn meddwl am y clytiau bychain sydd yn Nghymru, a hyny am ardreth drom. Cofiwch, ddarllenydd, mai *freeholders* yw ffermwyr Canada, wedi cael y tir yn rhad ac am ddim. Lle gwael sydd i landlordiaid yn Nghanada. 'Does yma ddim "diwrnod talu'r rhent" gyda'r ffarmwr, na phesgi phesanod ac ysgafarnogod i'r gwr boneddig, na thalu at gadw cwn hela. Na, ddarllenydd, mae y mater tir yn y wlad hon yn hollol fel ag y mae y Duw mawr wedi bwriadu i bethau fod. Gwlad y gwerinwr ac nid gwlad y boneddwr yw hon, ac felly y bydd hyd ddiwedd amser.

Bangor, Saskatchewan, Canada,

Gorphenaf 31ain, 1909.

Cyrhaeddasom ddinas fawr Winnipeg am 10.30 foreu Sul, Gorphenaf 11eg, ar ol taith gyflym gyda'r Canadian Pacific Railway o Montreal, sef 1,449 o filldiroedd. Dylaswn fod wedi dyweyd mae y cyfaill llon a charedig Mr. John Owen (Felinheli gynt), oedd yn ein danfon am y Gorllewin yn Windsor Station, Montreal. Wel, dyma ni ar ben ein hunain yn Winnipeg, yn adnabod neb. Dim câr na chyfaill yn ein derbyn; ond gan ein bod yn brofiadol o hyn mewn gwledydd pellenig ereill, 'doedd ond myned ar yr un hen drac er cael hyd i'r Cymry yn y dref hon fel mewn trefi ereill y bum ar y cyntaf yn ddieithr ynddynt. Wedi sicrhau llety, dyma chwilio'r *Directory*, a chawsom allan fod yma "achos" Cymreig—sef yr *United Welsh Church*, yn Portage Avenue. Ar ol cael hyd i'r lle, gwelsom mai mewn ystafell fechan wrth ben masnachdai mawrion y byddai ein cyd-genedl yn cyfarfod i wasanaethu Duw eu tadau. Pan aethum at y lle, am yr ail waith, tua saith o'r gloch yn yr hwyr, yn fuan daeth amryw o Gymry yn nghyd; a'r cyntaf i'm cyf rch oedd y brawd Mr. Enoch Rees, o Lundain, sef brawd i'r Parch. Myrddin Rees. Mae yn ofid calon i ni ddyweyd ddarfod i Mr. Enoch Rees gyfarfod â damwain a brofodd yn angeuol (yn mhen pythefnos i'r awr o'r bron i'r adeg y bu i ni gyfarfod), pan yn croesi yr heol wrth fyned am y moddion nos Sul, drwy gael ei wasgu rhwng dwy o dramcars. Os cawn fyw i gyrhaedd yn ol i Winnipeg, yn mhen yr ychydig ddyddiau, bydd i ni dalu ymweliad â erw Duw yn yr hon y mae ein cyfaill yn dawel gysgu ei hun olaf, "allan o dwrf y byd a'i bethau," fel ag y dywedodd ein diweddar hen gyfaill, Mr. M. T. Morris (Meurig Wyn).

Mae dinas Winnipeg yn werth dod yr holl ffordd o Arfon i'w gweled. Mae yn sefyll ar ganol y gwastadedd, heolydd hynod o lydain, adeiladau a masnachdai mawrion, a phoblogaeth o dros 200,000. Yma mae y farchnad yd fwyaf yn Ymherodraeth Prydain Fawr. Yma hefyd y mae'r canolbwynt o'r hwn y bydd ymfudwyr yn cael eu chwalu am y Gorllewin pell. Winnipeg yw'r "Grand Junction" am Diriogaethau'r Gorllewin. Mae trefniadau y Llywodraeth yn y ddinas hon ar gyfer ymfudwyr yn ardderchog. Mae yma neuadd fawr, lle gall yr ymfudwr a'i deulu aros yn rhad ac am ddim am saith niwrnod. Cegin fawr a phobpeth angenrheidiol at wneyd bwyd (ond fod yn rhaid i'r teithydd ofalu am y defnyddiau); a gwelyau ac ystafelloedd glân, a'r ol am ddim. Pan ddown yn ol bydd yn bleser genym roddi pob hysbysrwydd a manylion i rai fydd eisieu gwybod pa fodd a pha beth i'w wneyd er gallu byw, am saith niwrnod, yn rhad ac am ddim, ag eithrio prynu defnyddiau bwyd, os byth y digwydd iddynt ddod i Winnipeg.

Rhan o dridiau fu ein arhosiad yn y dref hon y tro hwn, a gwelsom fod gofyn mawr am ddynion a merched, yn enwedig yn mhlith ffermwyr, a chyflogau uchel. Os am dir, neu waith ar dir, mae modd sicrhau y naill a'r llall yn Winnipeg. Hefyd, mae yma ar hyn o bryd ddigonedd o waith i'w gael, a chyflogau da i seiri coed a meini, a gweithwyr medrus a sobr mewn adranau ereill o waith. Mae dynion gyda ffermwyr yn derbyn o 6p. i 10p. yn y mis a'u bwyd yn ystod yr haf a'r cynhauaf, ond dipyn llai yn ystod y gauaf. Yn wir, mae gofyn mawr iawn am ddynion y dyddiau hyn i weithio yn y cynhauaf, ac mae y cyflog mewn rhai manau yn 1p y dydd a bwyd. Mae eisieu tua deng mil o ddynion yn y Gorllewin y dyddiau hyn. Hefyd, y mae gofyn mawr am ferched i wasanaethu mewn tai preifat, ac y mae y cyflogau o 3p i 5p y mis. Y ffaith am dani hi, mae yn Canada well lle i ferched ieuainc nag i ddynion, gan fod y cyflog yn uchel drwy'r flwyddyn, ac heblaw hyny mae y rhan fwyaf ag sydd yn dod allan yn priodi â dynion sydd yn ffermwyr mawr ac yn gysurus eu byd.

Mae tref Winnipeg yn un o'r trefi glanaf a welsom erioed. Y tai, o'r bron, wedi eu gwneyd o goed o'u sylfaeni i'r tô. Nid ydym wedi gweled yr un adeilad wedi ei doi â llechi. Dywedir fod "shingles" yn well na llechi am fod y tywydd mor gyfnewidiol yma. Mae yma drams trydan a goleu rhagorol, a phob gwelliantau diweddaraf.

Gan ein bod yn bwriadu dod yn ol i'r dref hon pan yn dychwelyd o'r Gorllewin, efallai y bydd genym ychwaneg i'w ddyweyd yn ein llythyrau nesaf, am y lle a'i fanteision.

Am haner awr wedi naw boreu Mercher, Gorphenaf 14eg, cychwynasom gyda cherbydres y Grand Trunk Pacific am Bangor, Saskatchewan, sef prif dref sydd yn nghanol y sefydliad Cymreig yn y rhanbarth hon o'r wlad, y lle mae y fintai fawr o'n cyd-genedl a ddaeth yma o'r Wladfa Gymreig yn Patagonia, rhyw saith mlynedd yn ol. Rhyw flwyddyn sydd er pan mae y rheilffordd wedi ei hagor y ffordd yma. Mae y daith o Winnipeg i Fangor yn 255 o filldiroedd, ac yn cymeryd dros ddeuddeg awr gyda'r gerbydres drwy wlad frâs a ffrwythlawn. Mae croesi gwastadeddau Portage La Prariie o ddyffryn Qu'Appelle yn un o'r golygfeydd ardderchocaf y gall dyn ei ddymuno. Yma y mae llynoedd tawel, afonydd grisialaidd, bryniau a mynyddoedd, nentydd, coedydd, mân ddyffrynoedd a gwastadedd, yr oll wedi ymgyplysu a'u gilydd, a phelydrau'r haul yn gwneyd yr olygfa yn fath o banorama nefolaidd. Natur yn mhob man fel pe mewn cystadleuaeth â hi ei hun.

Arhosodd y gerbydres am rhyw haner awr yn Portage La Prairie, a chawsom gipdrem ar y dref, ac er nad yw ei phoblogaeth heddyw ond rhyw 7,000, mae y lle yn cynyddu yn gyflym iawn. Mae pedair rheilffordd yn dod i mewn iddi, ac yn sefyll ar y brif linell perthynol i'r Grand Trunk Pacific rhwng Môr y Werydd a'r Môr Tawel. Ychydig, os dim, o ffermydd rhydd sydd i'w cael yn y rhan yma o'r wlad, gan eu bod oll wedi eu cymeryd, ond gellir prynu ffermydd wedi eu diwyllio am brisiau rhesymol a thelerau esmwyth. Yn wir, mae y ffermydd hyn yn rhatach yn y pen draw na *homestead* a'r tir yn wyllt ag heb ei drin a'i ffensio, a dim tŷ arno.

Wedi taith hynod ddymunol, wele ni yn cyrhaedd Bangor, Sask.; a D. Pryse Jones, fy nai, a Ted, fy mab, yn y depôt yn ein disgwyl. Wedi disgyn o'r tren, gofynasom i Jones, " P'le mae'r station ?" " O, yn y fan hon," meddai,—a dyna oedd, dim ond polyn telegraph a darn o bren arno, a'r gair " Bangor," a phlanc i groesi ffrwd fach at y " dref "—sef pentref a rhyw haner dwsin o dai a dwy siop. Wrth gwrs, ddarllenydd, cofiwch mai lle newydd spon yw, ond fe fydd yma dref fawr yn fuan iawn. Cawsom lety cysurus a derbyniad llawen yn Ngwesty Dirwestol yr Arfonia, perthynol i Mr. a Mrs. Thomas Owen, gynt o Fangor, Gogledd Cymru. Mae Mr. Owen yn enedigol o Fangor, a Mrs. Owen o'r Felinheli. Mawr oedd ein llawenydd wrth glywed y plant a phawb o'n cwmpas yn siarad dim ond Cymraeg croew, glan, y Gogledd, ac yn gwneyd i ni feddwl ein bod yn ol yn Nghymru.

Saskatoon, Saskatchewan,

Awst 4ydd, 1909.

---

Mae y 15fed dydd o fis Gorphenaf yn ddydd pwysig yn ein hanes bob blwyddyn canys dyma ddydd ein pen blwydd; a'r tro hwn wele ni yn agor ein llygaid yn nhref fach Bangor, Saskatchewan, yn nghanol y sefydliad Cymreig mwyaf yn Canada. Mae y rhan fwyaf o'r boblogaeth yn cael eu gwneyd i fyny o'r fintai fawr a ddaeth yma tua saith mlynedd yn ol o'r Wladfa Gymreig yn Mhatagonia. Rhif y fintai hon oedd tua 270; ond erbyn heddyw, mae poblogaeth y sefydliad tua 500 rhwng gwyr, gwragedd, a phlant. Dyddorol iawn yw hanes y rhan fwyaf o'r Patagoniaid. Mae rhai ohonynt wedi myned trwy galedi mawr yn y gorphenol yma ac yn Mhatagonia, ond mae ysbryd penderfynol a dyfalbarhad wedi sicrhau iddynt, erbyn hyn, lwyddiant mawr ac anibynol. Tystiolaeth y rhan fwyaf yw ddarfod iddynt gyrhaedd i Canada heb ddim arian, yn wir yn dlawd iawn. Heddyw, mae gan bob penteulu fferm o 160 o aceri, a'r rhan fwyaf o'r bechgyn ag sydd dros 18 oed fferm o'r un faint, stoc dda o geffylau, gwartheg, moch, ac felly yn mlaen, yn nghyda adeiladau da a chlyd, pob math o offerynau at drin y tir a chasglu i fewn y cnydau toreithiog, wageni a cherbydau. Mewn gair, mae y dyddiau blin yn mhlith ein cydgenedl yn y rhan hwn o'r byd yn mhlith yr hyn a fu.

Lle newydd, dwyflwydd oed, yw Bangor, Sask., yn cael ei wneyd i fyny o'r stesion, sef darn o bren dwy droedfedd wrth chwe' modfedd a'r enw

"Bangor" arno, wedi ei hoelio ar bolyn telegraph; siop Mr. D. Roberts, gynt o Gorwen; siop Mr. David Coslet Thomas; efail Mr. Gomer Jones, y gof; Arvonia Temperance, Mr. Thomas Owen; livery stables, Mr. Williams; tŷ Mr. Mann; a dau *elevator* mawr. "Y Dre'" y geilw y trigolion amgylchynol Bangor y wlad hon, ond prin mae yn deilwng o'r enw pentra, ond mae yn bur debyg y bydd yn ddinas fwy na dinas esgobol Bangor, G.C., yn mhen y deng mlynedd nesaf, gan ei bod yn nghanol y rhan oreu o'r wlad am dir gwenith. Mae llinell fawr y Grand Trunk Pacific Railway, sydd yn rhedeg drwy y rhanbarth hon o'r wlad yn sicr o fod yn foddion i ddadblygu y lle hwn yn fawr iawn yn y dyfodol.

Wedi treulio ychydig oriau yn "Y Dre," aethum allan chwe' milldir i ffermdy Mr. Benjamin Jones, a threuliasom wythnos yn hynod hapus ac addysgiadol gyda'r teulu caredig hwn. Mae fferm Mr. Jones a'r meibion yn filldir a chwarter ysgwar, a'r oll o'r bron o dan wenith, haidd a cheirch.

Dydd Gwener, Gorphenaf 16eg, aethum gyda Mr. Jones a'r teulu mewn wagen fawr i Atwater, tua 12 milldir i'r dwyrain, er gweled y *sports*, a dymunol iawn oedd canfod pawb yn siarad yn Gymraeg ar hyd a lled y wlad. Y dorf fawr yn Atwater megis un teulu mawr, a phawb yn cyfarch y naill a'r llall mewn Cymraeg glân a chroew, ac yn ymddangos yn hynod hoff o'u gilydd, a golwg dda ar bawb.

Daethum i gyfarfyddiad â llawer o'r Hen Wlad tra yn Atwater a Bangor, ac yn eu plith Mr. David David Roberts, gynt o Castellmai, Bontnewydd. Hefyd ei frawd, Mr. William David Roberts, sydd yn ffermio ei fferm ei hun, ddwy filldir o Waldrom. Cawsom y pleser o dreulio nos Sadwrn a rhan o'r Sabboth gyda Mr. William David Roberts. Mae gan y cyfaill caredig hwn un o'r ffermydd goreu yn y wlad—160 o aceri,—140 o ba rai sydd dan gwnd eleni, a golwg ardderchog ar yr oll. Hefyd, mae ganddo adeiladau hardd, chwech o geffylau rhagorol, gwartheg a moch, a thŷ anedd clyd a chysurus, ond y mae yn amddifad o un peth pwysig—sef gwraig!

Mae llawer o fechgyn ieuainc, fel Roberts, yn y rhanbarth hwn yn byw ar ben eu hunain, ac yn gorfod pobi, golchi, a gofalu am y tŷ a'r fferm eu hunain. Lle da i ferched ieuainc Cymru am wr, a hwnw yn gysurus ei amgylchiadau.

Mae amryw o'r bois hyn wedi gofyn i mi anfon gwraig iddynt. Wel, archeb go anodd ei chflawni yw hon, onite, Mr. Gol.? Eto, mae yma le da i aml un ag sydd, efallai, yn teimlo ei hun yn myned dipyn ar y shilff gartref. 'Rydym wedi ymweled âg amryw o dai y "batchers" yma, fel ag y gelwir y bechgyn sydd yn byw ar ben eu hunain, a pheth doniol yw gweled y pren golchi yn y gornel, yr heiyrn smwddio, tyniau pobi, a'r bocs powdwr pobi, mewn tŷ hen lanc. Er y cyfan, mae y dynion hyn, er yn eu hunigedd, yn byw bywyd hapus iawn, yn anibynol ac yn dda allan.

Chwe' blynedd sydd er pan mae Mr. William David Roberts, Castellmai, allan yn Canada, a gofynaf i chwi, ddarllenydd, yn mha le yn Mhrydain Fawr y gallasai gael 160 o aceri o dir am ddim, a llwyddo fel ag mae wedi gwneyd yn y wlad hon? Mae miloedd yn Canada wedi gwneyd yn hollol yr un fath a Roberts; ac yn sicr, ddarllenydd, dyma'r wlad ardderchocaf dan haul i'r sawl sydd â'i fryd am ffermio a bod yn *freeholder*, a sicrhau bywyd rhydd ac anibynol.

Treuliasom lawer awr ddifyr gydag amryw o'n cyd-genedl yn y sefydliad hwn, ac yn eu plith Mr. Gabriel, genedigol o ardal Towyn, Meirionydd. Mae yn y wlad hon er's 19 mlynedd. Yn ystod y rhan gyntaf o'i oes bu yn Awstralia, wed'yn am naw mlynedd yn Mhatagonia, a dychwelodd i Gymru, ac meddai, "'Roeddwn yn eu gweled hwy o dan draed yn yr Hen Wlad, a daethum yma, a hon yw y wlad oreu o'r oll yn ol fy marn i." Gellwch, ddarllenydd, anfon at Mr. Gabriel, Post Office, Bangor, Sask., os oes arnoch eisieu barn dyn craff am wlad fras a chyfoethog Canada.

Cyfaill arall ag sydd yn gwybod yn dda iawn am fanteision ac anfanteision Saskatchewan, yw Mr. Gwilym Lewis, postfeistr, Llewelyn, Sask. Bu Mr. Lewis drwy Gymru tua blwyddyn yn ol ar ran Llywodraeth y dalaeth hon

a da y gwyr beth yw sefyllfa pethau yna ac yma, a bydd yn bleser ganddo ateb unrhyw lythyr oddiwrth bersonau yn yr hen wlad yn nglyn â'r wlad hon.

Yn ystod ein arhosiad yn y sefydliad hwn, cawsom hefyd ymgom â'r cyfeillion canlynol :—Mr. Robert Roberts, gynt Clogwyn, Nantmor, Beddgelert, sef brawd i Mr. William Roberts, gorsaf-feistr, Groeslon, Arfon, a Mr. John Roberts, Post Office, Caernarfon ; Mr. Owen Griffith, Snowdon Street, Caernarfon ; Mr. Thomas Evans, brawd Mr. Jerimiah Evans, Gwrecsam ; Hugh Roberts, Tyddyn Mwdwal, Brynsiencyn,—hen gymeriad doniol wedi bod am flynyddau yn Cambria, Wis., Unol Dalaethau, a phan yn fachgen wedi gweithio gyda'r diweddar Mr. Owen Humphreys, yn y Glasgoed, Llanddeiniolen ; Mr. Moses Williams, Clwt Coedwr, Llangeithio, Aberteifi. Mae Mrs. Moses Williams yn hen gyfeilles â theulu parchus Cynlas, Bala. Mae y Moses hwn, fel Moses gynt yn yr Aipht, am i'w gyd-genedl ddod allan o gaethiwed, a'i galon yn tanio wrth feddwl am y miloedd sydd yn Nghymru yn byw o'r llaw i'r genau, tra mae gwlad fawr Canada heb chwarter ei phoblogi. Hefyd, mae ein cyfaill, Mr. John Coslet Thomas, Llewelyn, yn cyfeirio yn y *Drych* am Awst 26ain, am ein ymweliad â'r sefydliad Cymreig hwn, ac yn cadarnhau ein syniadau am y rhan hon o'r wlad.

Montreal, Canada, Medi 3ydd, 1909.

---

"All work and no play makes Jack a dull boy," medd rhyw hen ddihareb Seisnig, ac er fod pobl Canada yn gweithio yn galed, maent hefyd yn credu mewn mwynhau eu hunain, a bu cryn bicnicydda yn y sefydliad Cymreig yn ystod ein arhosiad yno, sef un yn Atwater, un yn Llewelyn, un yn Glyndwr, a'r diweddaf yn "Y Dre,"—Bangor,—wrth gwrs. Pawb yn troi allan y dyddiau hyn—yr hen a'r ieuanc,—a phawb am y goreu i wneyd y naill a'r llall yn hapus. Tra yn Llewelyn, gwelsom Mr. Peter Jones, gynt o Dyserth, Rhyl, a chefnder i'r Parch. Peter Jones, gweinidog gyda'r Wesleyaid yn Newmarket. Dymuna Mr. Peter Jones, Llewelyn P.O., Sack., gael gwybod yn mha le mae ei gefnder ar hyn o bryd, a byddai gair oddiwrtho yn bur dderbyniol.

'Roedd cyfeillion Glyndwr yn cael eu *picnic* cyn dechreu ar y gwair, meddent, ac 'roedd yno gyngherdd i fod ; ond ar ol y bel droed yr aeth mwyafrif y cynulliad, ac felly bu rhaid troi gartref heb gyngerdda y tro hwn. Mae y bel droed wedi cael rhyw afael ofnadwy ar yr oes bresenol yn mhob rhan o'r byd. Beth, tybed, fydd diwedd, a chanlyniadau, gorhoffder ein hieuenctyd am y gwag ddifyrwch hwn—y bel droed ?

Buom un diwrnod am daith gyda Mr. Moses Williams i Saltcoats, 20 milldir bob ffordd, mewn wagen, gan fyned heibio llawer iawn o ffermydd y Cymry, a rhaid i ni ddywedyd fod golwg ardderchog ar y cnydau, ac mae yr olwg a gawsom ar bobpeth yn mhell y tuhwnt i'n disgwyliad. Tir goreu y wlad, tai da, stoc fawr o anifeiliaid ac offerynau at drin y tir gan bawb.

Wrth gwrs, mae sefyllfa lwyddianus y sefydlwyr heddyw yn golygu llafur mawr a dyfalbarhad yn y gorphenol, ond er hyn maent yn anibynol, ac ni ni raid iddynt "chwenych gwen nac ofni gwg" yr un tirfeddianwr. Dyma'r dosbarth mwyaf hapus a llwyddianus o'n cyd-genedl a welsom erioed. Mae Canada mor aruthrol o fawr fel y mae yma ddigonedd o le eto i filoedd ag sydd heddyw yng Nghymru i sicrhau sefyllfa hollol 'run fath a'n cyfeillion hyn. Hefyd, mae'r wlad yn hynod o iach. Nid oes gymaint ag un meddyg yn yr holl sefydliad. Ni welsom ychwaith gymaint ag un dyn allan o waith, ond gwelsom fod galwad mawr am weithwyr a hyny am gyflogau da. Mae yn y sefydliad hwn gyfleusdra rhagorol i brynu aml i fferm, wedi ei datblygu a gwelliantau da wedi eu gwneyd, yn weddol rad ac ar delerau ysgafn. Y rheswm am hyn yw fod aml i ddyn ieuanc dibriod yn blino ar ei unigrwydd, ac, o ganlyniad, yn cael ei feddianu â'r ysbryd i grwydro er chwilio am le gwell—ond p'le mae i'w gael y mae'n anodd dyweyd, ond dyna'r ffaith.

Methu cael gwragedd mae'r rhan fwyaf o'r bois yma, a dyna'r rheswm eu bod yn anesmwytho ar eu byd da. Os byddwch, ddarllenydd, yn awyddus am fwy o fanylion am y ffermydd hyn, a'r telerau, bydd yn bleser genym ateb unrhyw ofyniad pan ddown gartref i Ebenezer, Arfon, tua diwedd y mis hwn.

Mae achos crefyddol y sefydliad yn bur obeithiol, a chawsom bleser mawr yn gwrando ar y pregethwr rhagorol, y Parch. Mr. Johns, sydd wedi dod yma yn ddiweddar o Goleg Trefecca. Gwr ieuanc yw Mr. Johns, yn ddysgawdwr dwfn, yn feddyliwr craff, ac yn bregethwr coeth ac effeithiol, ac, yn sicr, fe ddaw yn un o gewri pwlpudau y Methodistiaid Calfinaidd cyn hir. Bydd yn symud i Winnipeg yn mis Hydref, a dymunwn ei lwyddiant yn ei faes newydd.

Wedi treulio tua tair wythnos yn mhlith y Cymry, aethum yn mlaen am Saskatoon, taith o rhyw 250 o filldiroedd, gyda'r grand Trunk Pacific Railway, a chawsom eto olygfa ardderchog ar y wlad fawr a chyfoethog hon—Canada. P'le mae pen draw y tir bras a thoreithiog hwn, nis gwyddom. Miloedd ar filoedd o aceri o'r cnydau gwenith, haidd a cheirch mwyaf a welsom erioed. Da y gwyddom beth yw y veldt fawr ddi-bendraw yn Neheubarth Affrica, ond nid yw ffermydd Affrica ond megis gerddi o'u cyferbynu â ffermydd Canada. Heblaw hyny, nid oes ffermydd i'w cael am ddim yn Affrica fel ag y maent yma. Y ffaith am dani, mae yn anichonadwy rhoddi desgrifiad cywir o'r wlad fawr a rhyfeddol hon, a'i manteision enfawr.

Er cymaint a welsom o Montreal i Saskatoon, yn Nhalaeth Saskatchewan, ni welsom gystal gweryd yn unman ag a welsom yn y sefydliad Cymreig tua Llewelyn, Glyndwr, a Bangor. Bu y Bonwr Gwilym Lewis yn bur graff pan ddaeth o Batagonia i "chwilio'r tir" ar ran ei gyd-genedl i ddewis y wlad yn nhosbarth Yorkton. Tir dipyn yn ysgafn sydd tua Saskatoon, a da y gwyr pob ffermwr profiadol beth olygai hyn yn mhen amser. Tref dlos yw Saskatoon, yn sefyll ar afon fawr Saskatchewan, dwfr pa un sydd yn hynod o lân a phur. Gair Indiaidd yw *Saskatchewan*, yr hyn o'i gyfieithu yw "Yr Afon Gyflym."

Pum' mlynedd yn ol, nid oedd poblogaeth y dre' hon ond rhyw 100, ac ychydig o "shacks," neu dai coed, ond erbyn heddyw mae ei phoblogaeth yn agos i 10,000; adeiladau hardd, masnachdai mawr, wyth o ariandai, y teliffon, a'r goleu trydan yn mhob tŷ o'r bron. Cyhoeddir yno ddau newyddiadur yn ddyddiol a dau yn wythnosol. Y mae wyth o wahanol reilffyrdd yn dod i fewn i'r dref hon, ac y mae y lle yn ganolbwynt pwysig rhwng talaeth Saskatchewan ac Alberta. Mae yma amryw o ffatrioedd blawd, coed, *cigars* a 'bacco, a gweithfeydd ereill. Y mae yma bedair o bontydd hardd dros yr afon, a phob dyfais a gwelliantau diweddaraf er gwneyd masnach eang. Mae yn ddinas hynod iach, a golwg hapus a llwyddianus ar ei thrigolion, ac mae yn myned ar gynydd yn gyflym iawn. Cawsom ymgom âg amryw o brif fasnachwyr y dref, ac ymddangosant yn hynod galonog am y dyfodol. 'Roedd galwad da am weithwyr o bob dosbarth pan oeddym yno, ac mae'r cyflogau dipyn yn uwch na'r hyn ydynt tua Montreal a Quebec. Rhaid myned cryn bellder allan o'r dref er sicrhau tir am ddim, gan fod yr oll ag oedd, rhyw ddwy flynedd yn ol, yn agos i'r dref wedi ei gymeryd i fyny, a pha un sydd wedi codi llawer yn ei werth erbyn hyn. Wedi treulio rhai dyddiau yn hapus iawn yn y dref brydferth hon dychwelasom i Fangor, er canu yn iach i'n cyfeillion caredig yno a'r cylch cyn troi yn ol am Winnipeg.

Argymhellwyd ni yn fawr gan ein cyfeillion i sefydlu yn eu plith yn "Y Dre',"—Bangor,—ond am resymau neillduol a theuluaidd, nis gallem y tro hwn; ond hyderwn y cawn ymweled â hwy eto cyn hir.

Gallwn yn gydwybodol anog pawb ag sydd â'u bryd ar ymfudo i Canada wneyd yn uniongyrchol am dalaeth fawr Saskatchewan, gan aros am ysbaid tua Bangor, Llewelyn, a Glyndwr, ac yno weled pa fodd a pha beth mae ein cyd-genedl yn ei wneyd. Gallwn eich sicrhau y bydd i chwi gael derbyniad croesawus gan bawb.

Montreal, Canada,
Medi 6ed, 1909.

Am ugain mynud wedi pedwar foreu ddydd Mawrth, y 10fed o Awst, dyma ni yn ffarwelio â'r brawd doniol a charedig, Mr Thomas Owen, yr Arfonia Temperance, Bangor, Sack.; a daeth i'n hebrwng i'r " station " (?) gerllaw,—sef at y polyn teligraph hwnw, gyferbyn â pha un bydd cerbydres y Grand Trunk Pacific yn aros i dderbyn teithwyr. Yn mhen ychydig oriau, dyma ni yn Manitoba; ac wrth fod y dalaeth hon ychydig yn gynharach na'r talaethau ereill, cawsom weled y ffermwyr yn brysur yn tori gwenith gyda'r peiriant hwnw—y *self-binder.* Onibae am y peirianau hyn, fe fyddai yn anichonadwy i'r amaethwr gael y cynhaeaf i ddiddosrwydd mewn pryd, gan fod y cnydau mor fawr. Mae ganddynt beiriant at bob rhan o'r gwaith ond "stwcio" yr ysgybau. Er mor gywrain yw'r Ianci, mae wedi methu a dyfeisio offeryn i'r gwaith hwn hyd yma. Mae ganddo beiriant i lwytho a chodi'r gwair i ben y dâs, ac amryw daclau hwylus ereill.

Erbyn pump o'r gloch, wele ni yn ddiogel yn nhŷ Mr. a Mrs. W. Thomas, 358, William Avenue, Winnipeg. Mae y cyfeillion hyn yn cymeryd dyddordeb mawr yn yr achos Cymreig yn y ddinas hon.

Mae dyn, ambell dro, pan yn crwydro'r byd fel hyn, yn taro ar garictor adderchog a rhaid i ni, yn y fan hon, gael cyfeirio at y gwladgarwr pybyr, Mr. Griffith Jones, o Flaenau Ffestiniog, ond, meddai ef ei hun, " rhaid i chwi ddyweyd 'Gutto Bach y Postman,' neu fydda 'nhw ddim yn f'adnabod i." Wel, un rhagorol yw y " Postman," beth bynag, yn Winnipeg, tuagat bawb a fydd yn dod o hyd iddo pan wedi cyrhaedd yma o'r Hen Wlad Mae yma ers un mlynedd ar ddeg, ac yn gwybod am bob rhan o'r dref, a phawb sydd ynddi, o'r bron. Er mwyn sicrhau gwaith i Gymro newydd ddod yma, mae "Gutto Bach" lawer gwaith wedi taflu ei *job* ei hun er mwyn i'w gyfaill ei chael, ond buan iawn bydd wedi cael lle wedyn iddo ei hun. Bugail iawn yw Jones. Mae am i bawb ddod i'r capel, ac i berthyn i Gymdeithas Dewi Sant; ac os bydd dyn yn absenoli ei hun am ond ychydig bydd Jones ar ei ol. Mae yn hobi ganddo gynorthwyo pob Cymro a Chymraes ddaw i'r dref, ac nid oes neb o Gymru yn Winnipeg nad yw Jones yn gwybod am danynt. Drwyddo ef y daethum o hyd i'n hen gyfaill, Mr. Daniel Evans, gynt o'r Garnedd, Ebenezer, Arfon, a brawd i Mrs. R. B. Ellis Bronant, Bontnewydd. Ni wyddai Dan ein bod yn y dref, a gall y darllenydd ddyfalu y llawenydd fu pan gyfarfuasom a'n gilydd. "Tom anwyl, o b'le do'st ti?" meddai. Treuliasom y Sul, y 15fed, o Awst, gyda'n gilydd yn hapus iawn, gan fwrw'r draul am lawer o bethau ag sydd yn mhlith yr hyn a fu. Caled oedd ffarwelio â'n gilydd ar ol y cwrdd gweddi yn y capel nos Sul.. Da iawn oedd genym weled ein hen gyfaill, ei briod, a'i deulu, yn edrych mor dda a chysurus yn mhrifddinas Canada Orllewinol.

Cawsom ymgom â Dr. G. O. Hughes,—gwr parchus o Fon—cadeirydd, y Gymdeithas Gymreig yn Winnipeg; hefyd, gyda Mr. Watkin Williams, gynt o Bwllheli.

Buom yn aros yn Winnipeg am wythnos y tro hwn, a chawsom gyfle i edrych i mewn i lawer o faterion yn nglyn â llafur a masnach. Mae'r wlad yn y Gorllewin yn myned ar gynydd mor gyflym fel y mae gofyn mawr iawn am ddynion a merched i wasanaethu ar y ffermydd. 'Roedd eisieu dros ddeng mil ar hugain (30,000) o ddynion er casglu i fewn y cnydau, ac yr oedd y cyflogau yn uchel, sef o 12s. i 1p y dydd, a bwyd a lletty. Wrth gwrs, prinder gwasanaethyddion yw y rheswm fod y cyflogau mor uchel, ac yn ol pob rhagolygon, fe fydd y sefyllfa hon yn parhau am flynyddau lawer. Mae y miloedd ffermydd newydd sydd yn cael eu cymeryd i fyny bob blwyddyn yn sicrwydd y bydd digonedd o waith i'w gael i ddynion a merched yn ystod y blynyddau sydd eto i ddod.

Mae gofyn anferth am ferched fel morwynion yn y trefi ac yn y wlad, a'r cyflogau yn rhedeg o 2p 10s. i 9p yn y mis, yn nghyda bwyd a lletty. Mae morwynion yn y wlad hon yn cael edrych arnynt fel pe baent yn un o'r teulu, ac yn cael parch mawr, Nid rhyw ystori tylwyth teg yw y cyflogau hyn, canys y mae genym lythyrau o dan law boneddigion cyfrifol yn profi fod y cyfryw yn hollol gywir a gonest. Bydd yn bleser genym ddangos y cyfryw dystiolaethau i unrhyw ddarllenydd, os byddent o ddyddordeb iddynt, gan

na ddymunem ar un cyfrif gamarwain neb yn nglyn â'r manteision sydd i'w cael yn Canada.

Treuliasom ychydig amser gyda Mr. Bruce Walker, prif swyddog y Llywodraeth yn nglyn a'r adran ymfudo yn nhref Winnipeg. Mae Mr. Walker bob amser yn barod i wneyd pobpeth yn ei allu i bawb ddaw allan i sefydlu yn y wlad. Cymro o waedoliaeth yw Mr. Evans, Maer presenol Winnipeg; hefyd 'run modd Mr. Howels, prif farnwr yr Uchel Lys, Talaeth Manitoba.

Mae yn anodd i ni roddi amgyffred cywir am y cynydd anferth ag sydd wedi cymeryd lle yn ninas fawr Winnipeg yn ystod y blynyddau diweddaf. Ei gweled yw yr unig fodd i ddyn gael syniad cyflawn ohoni. Mae yno 150 o wahanol ffatriod; 18 o ariandai, yn nghyda 41 o ganghenau, yn y rhanau allanol o'r dref. Y mae yno 1,900 o drafaelwyr masnachol yn byw yn y dref. Mae y ddinas yn sefyll ar 14,000 o aceri o dir. Yn y flwyddyn 1870 nid oedd poblogaeth y lle ond 215, ond erbyn heddyw mae bron yn 150,000—cynydd ardderchog mewn 39 o flynyddau, onide? Mae yno 33 o ysgolion dyddiol, ac amryw golegau uwchraddol, a 115 o gapeli ac eglwysi o wahanol enwadau.

Cynhelir yno bob blwyddyn yr arddangosfa anifeiliaid fwyaf yn holl Canada; a digwyddodd hyn eleni yn ystod ein arhosiad yno, a chawsom olygfa fythgofiadwy.

Mae costau byw yn gymharol isel yno at eu gilydd, a phob dyfais ddiweddaf er cysur ac iechyd dyn.

Llawer gwaith tra yn y wlad y bu i ni ofyn i'n cyfeillion, "Beth am y gauaf yma?" a chredwn fod atebiad ein cyfaill, Mr. Daniel Evans, y Garnedd, yn ateb dros bawb, sef "Cael cord o goed, darn da o gig a bwyd yn y tŷ, y gauaf yma yw y tymor mwyaf hapus a welais erioed." Mae "cord," neu lwyth, o goed at gael tân, yn werth chwe' dolar â dolar am ei lifio. Ychydig iawn o lo a ddefnyddir yn y tai, gan fod coed yn rhatach, a mwy ohonynt yn y wlad.

Mae y Canadians genedigol yn edrych yn mlaen am y gauaf fel ag y byddwn ni yn yr Hen Wlad yn edrych am yr haf, canys dyma'r amser y maent yn mwynhau eu hunain. Nid yw y ffermwyr yn gwneyd dim yn y gauaf ond porthi'r anifeiliaid a thori coed at y tân, a myned o'r naill ffermdy i'r llall i edrych am eu gilydd. Wrth gwrs, maent yn gweithio yn y trefydd yn y gauaf 'run fath ag yn yr haf; masnach a phobpeth yn myned yn mlaen yr un fath y naill fis ar ol y llall.

Yn ol ein barn ni y ffermwyr yw y rhai mwyaf hapus ac anibynol drwy'r wlad, ac yn sicr hwy sydd yn myned drwy'r byd yma yn fwyaf diboen.

Dylaswn fod wedi dyweyd ddarfod i ni gyfarfod â Mr. Francis Jones, gynt o'r Park Wern, Bethel, Arfon, tra yn Winnipeg. Mae golwg dda ar y cyfaill hwn, a dymuna i ni ei gofio yn garedig at bawb yn ei hen ardal. Bu yn amryfusedd arnom hefyd i beidio cyfeirio at yr oriau hapus dreuliasom yn nghwmni Mr. William Owen, Bangor, Sask, gynt o Rhiw, Lleyn, a cyn-gydflaenor a'n hen athraw parchus yr Henadur Abel Williams, Abersoch. Mae Mr. Owen yn ffermio fferm dda, ond yn byw ar ben ei hun, ac yn cymeryd dyddordeb mawr yn yr achos crefyddol yn Mangor.

Am saith o'r gloch nos Lun, Awst 16eg, dyma ni yn gadael dinas brydferth Winnipeg am Montreal, ac yn ffarwelio, ond am dymor ni obeithiwn, a'n hanwyl fab Ted, ac amryw gyfeillion, ein calon dipyn yn drom, yn enwedig wrth fod Ted a ninau wedi cyd-fyw am rai blynyddau gyda'n gilydd yn Neheubarth Affrica, fel dau frawd, yn hynod hoff o'n gilydd.

Gan ei bod yn nos arnom erbyn hyn, bydd ein llith nesaf yn mlaen i Fort William a North Bay a manau dyddorol ereill.

Ar fwrdd yr agerlong *Twnisian*, Allan Line,

Medi 14eg, 1909.

Cyrhaeddasom Fort William am 7.30 foreu dydd Mawrth, y 17eg o Awst, ar ol taith o ddeuddeng awr drwy'r nos.

Tref fywiog yw Fort William, yn sefyll ar ben uchaf Llyn Superior. Gwneir masnach enfawr mewn ŷd yn y dref hon. Mae ynddi 9 o elevators, sydd yn ddigon mawr i gynwys pedair miliwn ar ddeg o fwsieli o wenith, haidd, a cheirch. Hefyd mae yma lawer o wahanol weithfeydd, megis melinau blawd, ffwrneisiau heiyrn a dur, ierdydd y gwahanol rheilffyrdd, a ffatriod coed.

Mae yn dref sydd yn myned ar gynydd yn gyflym iawn yn ddiweddar.

Cauir pob tŷ tafarn yn y dref hon o saith o'r gloch nos Sadwrn hyd foreu Llun, ac mae hyn yn drugaredd, gan fod y boblogaeth yn cael ei gwneyd i fyny o bob cenedl dramor.

Tair milldir oddiyma mae Port Arthur, a'i boblogaeth wedi cynyddu dros ddeng mil mewn llai na phum mlynedd. Credir yr allforir dros gan miliwn o fwsieli o wenith, &c., rhwng y lle hwn a Fort William yn ystod y tymor presenol. Mae yn y ddwy dref hyn leoedd da i grefftwyr, a chyflogau da.

Wedi taith ddigon dymunol, 'rydym yn cyrhaedd North Bay am wyth o'r gloch foreu Mercher. Tref brydferth yw North Bay, yn nghanol coedwigoedd mawrion Talaeth Ontario; poblogaeth, rhyw 6,000. Gan milldir i'r gogledd oddiyma y mae Cobolt, ac yno mae y mwngloddiau arian mwyaf yn yr holl fyd. Mae yno dros 30 o feins, a tua 5,000 o boblogaeth. Dywedir fod y cyflogau yno o 8s. 4c. i 15s. y dydd, ond mae bywyd ar y gwersyllau hyn yn arw, a rhaid i'r sawl sydd am fyned i'r cyfryw leoedd gofio nad yw yn myned i gael yr un manteision cymdeithasol a chrefyddol ynddynt ag sydd yn Nghymru. Rhaid ei ryffio hi yno, onide bydd dyn ar ol. Ond mae yno arian da i'w cael.

Yn ystod ein taith o North Bay i Ottawa, ar y tren, daethum i gyfarfyddiad a gwr enwog, o waedoliaeth Cymreig, sef Dr. J. W. Edwards, Aelod Seneddol dros Kingston, Talaeth Ontario. 'Roedd ef a'i briod, a mab a merch, yn dychwelyd gartref ar ol taith fawr drwy British Columbia a'r talaethau gogledd-orllewin; a chawsom lawer o fanylion am ranau enfawr o'r wlad ag sydd eto heb ei phoblogi. 'Roedd Dr. Edwards yn daer iawn arnom i ddwyn i sylw y Cymry y rhan hono o'r wlad a elwir Peace River District, yn y gogledd i dalaeth fawr Alberta, ac yn dyweyd y byddai yn bleser ganddo ddod a'r mater o flaen y Senedd yn Ottawa pe bai mintai fawr o Gymry yn gwneyd cais am le i sefydlu, gyda'u gilydd, yn y rhan hono o'r wlad. Derbynied miloedd ddarllenwyr y *Genedl* yr awgrymiad amserol hwn, a bydd yn bleser genym ninau roddi pob cynorthwy er sicrhau llwyddiant y mudiad. Mae y tir i'w gael yn rhad ac am ddim, a'r oll sydd eisiau yw penderfyniad a dyfalbarhad, ac mae llwyddiant ac anibyniaeth yn sicr o ddilyn. Mae yna lawer o fân fanteision i'w cael pe bai mintai fawr yn ymuno a'u gilydd ac yn myned drosodd ar unwaith, fel ag y gwnaeth ein cyfeillion sydd heddyw tua Llewelyn, a Bangor, Sask., ond ni chaniata gofod i ni yn y fan hon eu nodi.

Erbyn tri o'r gloch wele ni yn ninas brydferth Ottawa, a saif ar afon o'r un enw. Ottawa yw prif ddinas Canada. Yma mae Senedd-dai y wlad, a phob math o weithfeydd, ac mae yn y gymydogaeth lawer o wahanol fwngloddiau. Gan ein bod wedi bod yn y dref hon o'r blaen, ac eisieu galw yno wedyn, aethum yn mlaen am Montreal, gan gyraedd cartref cysurus ein cyfeillion Mr. a Mrs. J. H. Roberts, 757, Atwater Avenue, a gynt o Gwalia House, Porthmadog, am saith o'r gloch y nos, yn ddigon blinedig ar ol y daith o 1,449 o filldiroedd o Winnipeg.

'Roedd hwn yr ail dro i ni ddod i Montreal, a chawsom bum diwrnod o seibiant yma, a chawsom y fraint o gyfarfod y Parch. Enoch Anwyl, o Lanwyddelen, a gwrandaw arno yn pregethu ddydd Sul, Awst 22ain. Bu Mr. Anwyl a minau gyda'n gilydd drwy'r dydd ddydd Sadwrn, yn gweled gwahanol fanau o'r ddinas Babyddol hon. 'Roedd ein parchus gyfaill yn ein gadael am Utica, N.Y., foreu Llun, Awst 23ain, a gwelsom ef yn ddiogel yn y gerbydres. 'Roedd Mr. Anwyl yn myned am daith bregethwrol am dri mis drwy'r Unol Dalaethau, a gobeithiwn y cawn ei weled yn ol yn Nghymru cyn bo hir.

Yr un noswaith wele ninau eto yn y gerbydres gyda naw cant o filldiroedd o'n blaen, sef am Chicago gyda'r Grand Trunk Pacific Railway.



FFARM YN BRITISH COLUMBIA.

O ddau ddrwg, mil gwell genym gysgu ar ganol y cefnfor na mewn tren, ond y tren oedd hi y noson hon. Erbyn saith o'r gloch foreu dranoeth dyma ni yn cyrhaedd tref fawr a bywiog Toronto—y dref lanaf a'r mwyaf *up-to date* yn nhalaeth Ontario. Yma 'roedd y cyfaill bywiog, a'r masnachydd medrus, Mr. John Owen, Felin heli, yn ein derbyn. Saif y dref hon ar lan Llyn Ontario, prif ddinas talaeth Ontario, ac yma mae Senedd-dŷ y dalaeth. Mae ynddi brifysgol ardderchog, ac mae rhif y myfyrwyr yn agos i bedair mil. Dywedir fod ynddi tua 400 o Gymry, ond yr unig un a welsom oedd y brawd John Owen, a threuliasom ddiwrnod hapus yn ei gwmni yn gweled rhyfeddodau y ddinas. Mae yn hawddach i ddynion a merched ieuainc yr Hen Wlad gael gwaith yn y dref hon nac yn Montreal, gan nad yw yn ofynol gallu siarad Ffrancaeg ynddi fel yn Montreal. Mae yn dref hollol Seisnigaidd, ac mae dyn yn teimlo yn fwy cartrefol ynddi nag yn y ddinas Babyddol.

'Roedd parotoadau mawr yn myned yn mlaen y dyddiau hyn gogyfer a'r exhibition oedd i'w chynal yr wythnos ganlynol. Cawsom gip arni wrth ddychwelyd o Chicago, ond bydd ein sylwadau am yr hyn a welsom yn ein nesaf.

Ar fwrdd yr agerlong *Tunisian*, Allan Line,
Medi 16eg, 1909.

---

Boreu Mercher, Awst 25ain, cychwynasom gyda'n cyfaill Mr. John Owen (Felinheli), am Hamilton a Niagara Falls. Tref brydferth a bywiog yw Hamilton, Ontario, a cherir yn mlaen fasnach fawr ynddi. Y mae ynddi dros 300 o ffatriod, yn cynwys haiarn, cotwm, gwlan, dodrefn, esgidiau, a peirianau amaethyddol; ac mae yn dref sydd yn myned ar gynydd yn gyflym iawn. Poblogaeth tua 63,000.

Wedi treulio ychydig oriau yma aethum yn mlaen am y Niagara fawr; ac am dri o'r gloch y prydnawn, y diwrnod yn boeth, wele ni yn sefyll wrth ben un o ryfeddodau ardderchocaf y greadigaeth—y Niagara fawr ac ofnadwy,—natur yn ei gogoniant, yn herio gallu a dyfais creadur o ddyn. Er holl fedr dyn nis gall am eiliad atal gallu ofnadwy a rhuad byddarol y corph dyfrllyd a dychrynllyd hwn. Mae syllu ar y Niagra fawr yn bregeth fythgofiadwy i hen bechadur. Mae'r olygfa yn ofnadwy, yn ddychrynllyd, a'r swm yn creu braw ac arswyd ar ddyn.

Bu ein cyfaill a ninau yn sefyll o fewn deunaw modfedd i'r ymyl, lle y cwymp y corph anfesuredig o'r dwfr drosodd i'r dyfnder odditanom. Mae yn anichonadwy tynu pictiwr o'r weledigaeth ryfeddol hon. Nid oes y fath olygfa yn un man ar y ddaear.

Dywedir fod can miliwn o dunelli o ddwfr yn treiglo dros y cwymp hwn bob awr. Pwy all amgyffred beth olyga hyn? Mae daearegwyr yn dal fod y *falls* ar y dechreu tua saith milldir yn is i lawr yr afon i'r lle y mae heddyw, ac fod 35,000 o flynyddoedd wedi myned heibio er pan wisgodd y dwfr ymaith y graig i'r man y mae yn awr.

Mae afon Niagara yn tarddu yn Llyn Erie, 22 o filldiroedd o'r Falls, ac yn myned i Lyn Ontario 14 yn is i lawr.

Gwelsom hefyd y chwyrndrobwll dychrynllyd yn mha un y boddodd y Capten Webb. Buom yn sefyll ar y graigle o'r man y neidiodd y creadur i'w ddyfrllyd fedd. Mae yn anodd credu fod Webb yn ei iawn bwyll pan wnaeth y fath beth,—mae y lle yn arswydus.

Os digwydd i chwi, ddarllenydd, fyned rhyw dro o fewn mil o filldiroedd i'r Niagara, gofalwch am ei gweled, ac, yn sicr, ni bydd i chwi byth anghofio yr olygfa.

Gyda'r nos aethum yn mlaen am Buffalo, yn yr Unol Dalaethau, gyda'r *tramcar*, taith o 25 o filldiroedd, ac yno y bu i ni aros dros y nos.

Dyma eto dref hardd, a'r Ianci wrthi hi fel pe am ei einioes, neu o leiaf am ei dduw—y "*mighty dollar.*" Mae yr Ianci am bob owns o yni ag sydd mewn



AMAETHWR CYMREIG YN TORI GWAIR.



CARIO GWAIR.

dyn. "Na weithied na fwytaed," yw hi yn mhob man yn ngwlad yr Ianci. Gyda ni yn y dref hon 'roedd Mr. William Thomas, Andrew Street, Llanelli. Hynod oedd ein cyfarfyddiad a Mr. Thomas. 'Roedd Mr. Jack Owen a ninau yn cerdded drwy y Queen Victoria Park, Niagara Falls, ac, wrth gwrs, yn siarad Cymraeg, a dyna Mr. Thomas atom, ac meddai, "Cymry ydych ?" Wel, waeth heb ddweyd y fath oedd ein llawenydd o dan y fath amgylchiadau. Mae Mr. Thomas mewn swydd dda mewn siop yn Brantfort, Ontario, ac 'roedd ar ei wyliau blynyddol, a threuliasom oriau hapus iawn yn ei gwmni. Mae yn frawd i Mr. John Thomas, sydd yn Swyddfa y *Guardian*, Llanelli, ac hefyd yn frawd i Mr. Ivor Thomas o'r un dref.

Gadawsom dref Buffalo brydnawn Iau, Awst 26ain, yn ol am Hamilton, ac yno 'roedd y cyfaill John Owen yn ein gadael am Toronto, a ninau yn cychwyn am un o'r gloch y boreu (Gwener) am Chicago.

Mae y wlad y ffordd yma yn hynod ffrwythlawn, miloedd ar filoedd o aceri o winllanoedd o bob math o ffrwythau, megis eirin, afalau, gerllyg, a phethau o'r fath, a allforir i'r wlad hon bob blwyddyn. Mae miloedd o ffermwyr yn y rhan hon o dalaeth Ontario yn gwneyd yn dda iawn drwy godi ffrwythau yn hytrach na chodi ŷd. Mae y tir a'r amgylchoedd yn fwy cyfaddas i dyfu ffrwythau na gwenith a cheirch, am y rheswm mae gwlad goediog yw, ac mae acer o berllan yn talu yn well na deng acer o wenith. Mae digonedd o leoedd da i arddwyr yn y dalaeth hon ; a gall dyn a thipyn o arian yn aml brynu fferm fechan yn ei llawn broffit yn rhad, a thrwy hyny sicrhau bywoliaeth gysurus. Mae yn y dalaeth hon ddigonedd o dir coediog ellir ei brynu am ddwy ddolar—sef 8s. 4c.—yr acer, a hyny yn ymyl y ffordd haiarn, ac fe dal y coed yn ardderchog am eu clirio, yn enwedig coed poplys, at wneyd papyr, ac y mae marchnad ardderchog i'r cyfryw y dyddiau hyn. Mae y Llywodraeth yn gwerthu y cyfryw diroedd ar delerau ysgafn, a chaniateir blynyddoedd i dalu, fel nad yw yn angenrheidiol fod gan ddyn arian wrth law i'w prynu. Caniateir meddiant uniongyrchol. Ieuenctyd Cymru, da chwi, ymwrolwch a mentrwch allan a sicrhewch y tiroedd bras a ffrwythlawn hyn. Yn sicr i chwi fe ant yn brinach bob blwyddyn. Dywedir fod miloedd yn y deyrnas hon a'u bryd ar Canada, ac am ymfudo yno y flwyddyn nesaf. Gallwn eich sicrhau nad yw'r daith dros y mor yn ddim. Mae megis *holiday* ardderchog.

Wedi taith gyflym gyda'r Grand Trunk Pacific Railway o Hamilton, yn mhen rhyw 15 awr dyma ni yn dod i olwg dinas fawr Chicago, ac yn ystod y pum milldir olaf o'r daith yr ydym yn myned drwy y rhan hono o'r dref a elwir "Packing Town ;" ac mae'r arogl, hyd yn oed yn llenwi y gerbydres, o'r miloedd moch, gwartheg ac ychain a leddir yno yn ddyddiol yn anodd iawn ei oddef.

Cyrhaeddasom orsaf Dearborn Street erbyn tri o'r gloch y prydnawn, a gwnaethom ar unwaith am gartref cysurus y Cymro caredig, a'r bardd cadeiriol, Mr. Deudraeth Jones, ac yno bu ein arhosiad tra yn y ddinas ofnadwy a phechadurus hon, ac am ba un y bydd genym dipyn i'w ddyweyd yn ein nesaf.

Hefyd, amcanwn orphen hanes y daith fawr hon yr un pryd.

Ebenezer, Arfon,
Hydref 21ain, 1909.

---

Fe gofia y darllenydd mai yn Chicago fawr y bu i ni ddiweddu ein wythfed llythyr. Cawsom lety cysurus yn nghartref hapus Mr. Deudraeth Jones, ond fe fu yn ofid i ni na chawsom gwmni y bardd caredig gan ei fod oddicartref dan driniaeth mewn Ffynhonau Mwd Poeth, yn Indiana, er cael gwellhad o'r crydcymalau.

Daethum i gyfarfyddiad â llawer o Gymry tra yn y ddinas bechadurus hon, a threuliasom ddydd Llun, Awst y 30ain, yn nghwmni y Cymro enwog a thalentog, Mr. Ap Madoc. Aeth a ni i weled llawer o ryfeddodau y dref, ac 'roedd yr oriau y bu'm gydag ef yn hynod ddyddorol ac addysgiadol.

Dyma'r ddinas fwyaf ofnadwy a welsom erioed. Mae holl dafarndai, y chwareudai, a *music halls*, yn agored drwy'r dydd, a'r nos o'r bron, bob Sul. Yr unig wahaniaeth rhwng y Sul a dyddiau ereill o'r wythnos yw fod y prif fasnachdai yn nghauad. Dyma Sodom yr Unol Dalaethau. Y "*Mighty Dollar*" yw eu duw—a dim arall. Mae poblogaeth y ddinas dros ddwy filiwn a haner, a dywedir fod ynddi dros bedair ugain mil o Gymry. Maent yn byw mewn lle ofnadwy, o ran pechodau. Fe ddywedodd Mr. Upton Sinclair lawer iawn o wirioneddau yn ei lyfr enwog, "*The Jungle,*" am y ddinas hon a'i thrigolion. Mae yn dref hardd o ran adeiladau, parciau, a phethau o'r fath; ac yn lle da am waith i seiri coed, meini, bricklayers. Gwelsom yno ddynion yn enill o 24s. i 28s. y dydd—ond!

Gadawsom y lle brydnawn Mercher, Medi 1af, gan ddiolch ein bod yn fyw, am ddinas Toronto, yn Canada, lle y chwifia'r *Union Jack*, a moesoldeb a'r fasnach feddwol o dan well trefn na'r hyn yw o dan y *Stars and Stripes*.

Treuliasom ddydd Iau, Medi 2il, yn Exhibition fawr Toronto, a gwelsom yno goedydd mawrion o British Columbia, rhai ohonynt yn llathen a thri-chwarter o drawsfesur. Rhaid gweled y fath goedydd cyn y gellir, o'r bron, gredu fod y fath rai yn tyfu un unman.

Dywedwyd wrthym gan oruchwyliwr Talaeth British Columbia fod gofyn parhaus am ddynion i weithio yn y mwngloddiau aur, copr, a phlwm yn y dalaeth hono, a thelir cyflogau da, a bod yno waith sefydlog drwy'r flwyddyn, a bod yr hinsawdd yn hynod ddymunol. Cofied y sawl fydd am fentro allan i British Columbia mai drwy Montreal a Chanada yw y ffordd oreu o ddigon, a rhataf, i fyned yno. Hefyd, mae y daith yn fyrach.

Gwelsom samples ardderchog o'r mwn arian o'r mwngloddiau anferth sydd yn Cobalt, Ontario, yn mha le mae y gweithfeydd arian mwyaf yn yr holl fyd. Mae Talaeth Ontario, yr un modd British Columbia, yn gyfoethog iawn mewn mwnau, a gweithfeydd o bob math, a digonedd o waith a chyflogau da i'w cael i ddynion sobr a gweithgar.

Wedi treulio dau ddydd hapus ac addysgiadol yn Toronto, dychwelasom gyda'r Grand Trunk Pacific Railway yn ol i Montreal, gan gyrhaedd yno yn ddiogel nos Wener, y 3ydd o Fedi; ac, erbyn hyn, wedi teithio trwy ran o wlad fawr Canada a'r Unol Dalaethau, dros chwe' mil o filldiroedd.

Gall y darllenydd gredu fod dyn wedi gweled cryn lawer, ac wedi casglu gwybodaeth pur dda am y wlad fawr a chyfoethog yn y Gorllewin Pell, yn ystod taith mor faith. Bu rhaid aros yn Montreal am long am yn agos i wythnos; ac yn ystod ein harosiad derbyniasom garedigrwydd mawr gan lawer o'r Cymry, yn enwedig gan y Parch. John R. Evans, gweinidog poblogaidd Capel Salem; Mr. a Mrs. J. H. Roberts, gynt o Borthmadog; Mr. a Mrs. John Owen, gynt o Rhyl; a Mr. a Mrs. Owen Roberts, gynt o Moelfra, Mon; a hefyd Mr. Robert Vaux, brawd i un o'r swyddogion y Grand Trunk Railway yn Montreal.

Wel, mae diwedd ar bobpeth yn y byd hwn, a dyma ddiwedd wedi dod i'n taith yn Canada; ac am haner awr wedi wyth foreu Gwener, Medi 10fed, wele ni ar fwrdd y *Tunisian*, perthynol i'r Allan Line, a'n hwynebau am Lerpwl ac Arfon, a'r cyfeillion a enwir uchod wedi dod at y lanfa i'n hebrwng ymaith, gan ddymuno i ni bobpeth o'r hyn sydd dda. 'Roeddym yn teimlo yn hiraethus wrth eu gadael, a chredwn fod arnynt hwythau hiraeth, yn enwedig y merched, am yr Hen Wlad a'u perthynasau yno, wrth ein gweled ni yn gadael am Walia Wen. Er byw mewn gwledydd pell, a llwyddo yn dda, a threulio oes ddedwydd, mae calon yr hen Gymro yn agos iawn at "Hen Wlad y Menyg Gwynion" wedi'r cyfan, a bob amser yn addaw iddo ei hun, y caiff yntau "rhyw dro, ddod yn ol." Mae fel yr Israeliaid gynt yn yr Aipht am fyned yn ol i Ganaan—"rhyw dro."

Ni fanylwn ar hanes y daith dros y mor i Lerpwl heblaw dyweyd ddarfod i ni gael golygfa ardderchog tra yn dod i lawr Afon fawr y St. Lawrence o

Montreal i Quebec, a thaith gysurus dros y Werydd, er fod "Dafydd Jones" yn bur ddrwg ei hwyl am dridiau.

Gan mai gyda'r Allan Line yr aethum allan i Canada, ac yn ol, gallwn ddyweyd fod eu llongau ar darpariaethau gogyfer â'r teithwyr yn y dosbarth blaenaf, a gall y sawl ag sydd â'i fryd ar y wlad hono fod yn sicr o gael hollol foddhad yn nglyn â phobpeth yn ystod y daith gyda'r cwmni hwn.

Ac yn awr, Mr. Gol., wrth ddirwyn i ben y gyfres hon o'n llythyrau, dymunwn yn garedig ddiolch i chwi am ganiatau gofod mor helaeth yn y *Genedl* i ddwyn i sylw eich miloedd darllenwyr ychydig o hanes gwlad fawr Canada. A chan ein bod yn gwybod eich awyddfryd bob amser i wneyd unrhyw beth a fydd o les a mantais cenedl y Cymry, yn enwedig ei hieuenctyd, bydd i ni ddyweyd, yn fyr ond yn hollol onest a chydwybodol, ychydig ffeithiau anwadadwy.

Rhan yw Canada o Ymherodraeth fawr Iorwerth y VII., y Drefedigaeth agosaf i Brydain Fawr. Mae, o ran maint, dros bump ar hugain o weithiau yn fwy na'r ynysoedd hyn. Mae yn 3¾ miliwn o filldiroedd ysgwar—yn fwy na'r Unol Dalaethau America. Ei phoblogaeth tua saith miliwn, neu un ran o chwech o boblogaeth Prydain Fawr. Felly, syr, chwi welwch fod Canada yn dlawd iawn o ran poblogaeth, ond gallaf eich sicrhau ei bod yn hynod gyfoethog o ran tir, mwnau, a manteision dihysbydd i'r miloedd sydd heddyw yn Nghymru, pe baent ond mentro yno. Mae yn agos i ddeng mil a thriugain wedi ymfudo yno eleni o'r Unol Dalaethau, ond un craff yw'r Ianci, ac mae yn gwybod fod gwell tir, gwell cyfreithiau, llai o dollau a mwy o ryddid yn Canada, ac, o ganlyniad, mae yn gwneyd brys i feddianu y rhanau goreu o'r wlad cyn y bydd yn rhy ddiweddar. Caiff pob dyn wyth ugain (160) acer o dir ardderchog yn rhad ac am ddim, h.y., gall unrhyw ddyn dros 18 oed fyned yno a dewis y lle y myno, ac sydd eisioes heb ei feddianu, a ni raid iddo ond dywedyd wrth yr awdurdodau: "'Rwyf yn cymeryd i fyny y fferm hon," a dyna fe yn "*freeholder*," ar unwaith, yn feistr ei hun, yn iach ac yn rhydd oddiwrth landlordiaeth a duciaid. Gwelais â'm llygaid fy hun ganoedd o'n cyd-genedl ag sydd heddyw yn berchenogion ffermydd mawr a dim ceiniog o rent i dalu, ac mae yno le i filoedd ar filoedd eto wneyd yr un modd. Taith o ryw naw niwrnod, a dyna chwi ar y "spot," a'r tir i'w gael ond ei gymeryd i fyny.

O, anwyl gydwladwyr, deffrowch, a mentrwch allan i'r wlad fras a chyfoethog hon, a thrwy hyny sicrhau i chwi a'ch plant lwyddiant, rhyddid, ac anibyniaeth. Mae cenhedloedd ereill Ewrop yn myned yno wrth y miloedd bob blwyddyn. Paham nad el y Cymry? Mae cymaint o ofyn am ddynion a merched ar y ffermydd yn Canada fel yr ydym yn barod i sicrhau gwaith i bawb cyn iddynt fyned oddicartref. Byddwn yn trefnu i fyned allan yno eto yn mis Ebrill nesaf gyda mintai fawr. Ddarllenydd, a ydych am ddod i'r wlad lle mae diwydrwydd a dyfalbarhad yn sicrhau anibyniaeth?

Ebenezer, Caernarfon,
Tachwedd 24ain, 1909.